# Diogelu data – canllaw i’r hanfodion

Mae pandemig COVID-19 yn newid yr hyn rydyn ni’n ei wneud a sut. Os nad ydych wedi gorfod meddwl erioed am gadw data personol pobl eraill yn ddiogel, bydd y canllaw hwn yn helpu.

1. **Cadwch y data dan glo pan nad yw’n cael ei ddefnyddio.** Cadwch unrhyw beth sydd â data personol arno dan glo mewn cwpwrdd neu ddrôr pan nad ydych chi'n ei ddefnyddio: pethau fel gliniaduron, cyfrifiaduron llechen, gwaith papur a chofion bach USB. Bydd hyn yn lleihau'r risg y bydd pethau'n cael eu colli neu eu dwyn.
2. **Cadwch eich meddalwedd yn gyfredol.** Peidiwch â bod yn darged hawdd i hacwyr. Cadwch eich meddalwedd diogelwch yn gyfredol i'w gwneud yn fwy anodd iddyn nhw fynd i mewn.
3. **Cyfathrebwch yn ddiogel.** Os oes angen ichi rannu data gydag eraill, dewiswch ap negeseua diogel neu system ddiogel i rannu dogfennau ar-lein. Os oes rhaid defnyddio ebost, nad yw bob amser yn ddiogel, ystyriwch ddiogelu dogfennau â chyfrinair a rhannu'r cyfrineiriau trwy sianel wahanol, fel neges destun.
4. **Byddwch yn arbennig o wyliadwrus ynglŷn ag agor dolenni gwe ac atodiadau mewn negeseuon ebost neu negeseuon eraill.** Peidiwch â chlicio ar ddolenni neu atodiadau gwe anghyfarwydd sy’n honni eu bod yn rhoi diweddariadau pwysig i chi ynghylch COVID-19. Rydyn ni'n gweld cynnydd mewn sgamiau felly dilynwch ganllawiau'r Ganolfan Seiberddiogelwch Genedlaethol (NCSC) ynghylch adnabod negeseuon ebost amheus.
5. **Cadwch gopi wrth gefn o'ch gwybodaeth.** Cadwch gopi ar wahân o unrhyw wybodaeth bwysig i osgoi colli’ch gallu i’w gweld. Mae storio ar-lein yn ffordd hawdd o gadw copi o'ch data o hirbell os bydd arnoch ei angen. Neu cadwch gopi ar yriant caled neu gof bach USB ar wahân. Cofiwch osod cyfrinair cryf i ddiogelu’ch gwybodaeth a'i chloi i ffwrdd pan nad ydych yn ei defnyddio.
6. **Defnyddiwch gyfrineiriau cryf.** P’un a ydych chi’n defnyddio storfa ar-lein, gliniadur neu ryw dechnoleg arall, mae'n bwysig sicrhau bod eich cyfrineiriau’n anodd i'w dyfalu. Mae'r NCSC yn argymell defnyddio tri gair ar hap gyda'i gilydd fel cyfrinair (e.e. 'coffitrenpysgodyn' neu 'waltuncrys'). Gofalwch ddefnyddio cyfrineiriau gwahanol ar wasanaethau gwahanol hefyd.

I gael rhagor o ganllawiau, ewch i ico.org.uk/coronavirus